Yr ail Collect am dangnhefedd.

DUw, yr hwn wyt awdur tagnefedd, a charwr cyttundeb yr hwn o'th iawn adnabod y mae ein buched dragywyddol yn sefyll arnam, a'th wasanaeth yw gwir fraint; Amddyffyn nyd i di ostyngedig weision, rhag holl ruthrau ein gelynion; fel y gallom trwy gwbl ymddiried yn dy amddiffyn di, nac ofnom allu neb gwrthwynebwyr; trwy nerth Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

Y Trydydd Collect am gael Rhad.

O Arglwydd nefol Dad. Hollalluog a tragywyddol Dduw; yr hwn a'n cedwaist yn ddiangol hyd ddechreu yr dydd heddyw, amddiffyn ni ynddo a'th gadarn allu, a chaniatta

ata na syrthiom y dydd hwn mewn vn pechod, ac nad elom mewn vn rhyw berygl, eithr bod ein holl weithredoedd wedi eu trefnu a'i llywiaw wrth dy lywodraeth di, i wneuthur yn wastad y peth y sydd gyfiawn yn dy olwg di, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. Amen.

---

Y Letani i'w ar y Sulieu y Merchurau, a'r *Gwenerau*, &c.

DUW Tad o'r Nef: trugarhau wrthym wir bechaduriaid.

Duw Tad o'r Nef: Trugarha. &c.

Duw Fab Prynwr y byd trugarha wrthym wir bechaduriaid.

Duw Fab Prynwr y byd. &c.

Duw Yspryd glan yn ddeilliaw oddiwrth y Tad a'r Mab, trugarha wrthym

wrthym wir bechaduriaid.

Duw Yspryd glan yn Ddiddan, &c.

Y gogonedd, lan, fendigaid Drindod, tri pherson: ac un Duw: trugarha wrthym wir bechaduriaid.

Y gogoneddus, lan fendigaid. &c.

Nachofia Arglwydd ein anwiredd, nac anwiredd ein rhieni, ac na ddyro ddial am ein pechodau: arbed nyni, Arglwydd daionus arbed dy bobl a brynaist a'th werthfawr waed, ac na lidia wrthym yn dragywydd.

Arbed ni Arglwydd daionus.

Oddiwrth bob drwg ac anffawd; oddiwrth bechod, oddiwrth dyfeisiau a chyrch y cythrael, oddiwrth dy lid, ac oddiwrth farnedigaeth dragywyddol.

Gwared ni Arglwydd daionus.

Oddi-

Oddi-wrth bob-dallineb calon, oddiwrth falchder, a gwag ogoniant, a ffug sancteiddrwydd, oddiwrth genfigen digased a bwriad drwg, a phob anghariadoldeb.

**Gwaret ni Arglwydd daionus.**

Oddiwrth anniweirdeb a phob pechod marwol, ac oddiwrth holl dwyll y byd, y cnawd a'r cythrael.

**Gwared ni Arglwydd daionus.**

Oddiwrth fellt a thymhestl, oddiwrth bla haint y nodau, a newyn oddiwrth ryfel ac ymladd, ac oddiwrth angau dysyfyd.

**Gwaret ni Arglwydd daionus.**

Oddiwrth bob terfysc a dirgel fra oddiwrth bob ffalst ddysceidiaeth ac opinion annuwiol, oddiwrth galeddrwydd calon, a dirmig ar dy air a'th orchymmyn. **Gwaret**

**Gwaret ni Arglwydd daionus.**

Trwy ddirgelwch dy gnawdoliaeth trwy sanctaidd enedigaeth a'th enwaedlyd, drwy dy fedydd, dy umpryd, a'th brofedigaeth.

**Gwaret ni Arglwydd daionus.**

Trwy dy ddirfawring a'th chwys gwaedlyd, drwy dy grog a'th ddioddefant drwy dy werthfawr angau a'th gladdedigaeth, drwy dy annrhydeddus gyfoediad a'th escynniad od thrwy ddyfodiad yr Yspryd glan.

**Gwaret ni Arglwydd daionus.**

Yn holl amser ein trallod, yn holl amser ein gwynfyd, yn awr angeu ac yn nydd y farn.

**Gwaret ni Arglwydd daionus.**

Nyni bechaduriaid a attolygwn i ti ein gwrando O Arglwydd Dduw

a the ilyngu o honot gadw rhydit, a llywodraethu dy lan Eglwys yn hollawl yn y ffordd vnion.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot gadw a nerthu i'th wir addoli mewn cyfiawnder a glendid buched, dy wasanaethwr Charles ein grasusaf Frenin a'n pen llywydd.

Nyni a attolygwn i ti ein. &c.

Teilyngu o honot lywodraethu ei galon yn dy fydd, ofn a chariad, ac iddo ymddiried byth ynot, ac ymgais yn wastad y th anrhydedd a'th ogoniant.

Nyni a attolygwn i ti ein. &c.

Teilyngu o honot amddiffyn a'i gadwgan roddi iddo y fuddigoliaeth ar ei holl elynion. Nyni

*Nyni a attolygion i ti ein.* &c.

Teilyngu o honot fendithio a cadw ein grasusaf frenhines Mari, yr Arderchog Dywysog *Charles*, yr Arglwyddes Mari, Frederic, y Tywysog Palatin, a'r Arglwyddes Elizabeth ei wraig, a'i Tywysogawl eppil.

*Nyni a attolygion i ti ein.* &c.

Teilyngu o honot lewyrchu 'r holl Escobion, Bugeiliaid, a Gweinidogion yr Eglwys ag iawn wybodaeth a deall dy air, a bod iddynt hwy trwy eu pregeth a'u buchedd ei fynegi, a'i ddangos yn ddyladwy.

*Nyni a attolygion i ti ein.* &c.

Teilyngu o honot genysgaeddu Arglwydd i'r Cyngor, a'r holl fonedd a gras, doethineb a deall.

*Nyni a attolygion i ti ein.* &c.

Teilyngu

Teilyngu o honot fendithio a chadwy pen-swyddogion gan roddi iddynt ras i weneuthur cyfiawndet, ac i faentaino y'r gwir.

Nyni a attolygwn i ti em, &c.

Teilyngu o honot fendithio a chadw dy holl bobl.

Nyni a attolygwn i ti em, &c.

Teilyngu o honot roddi i bob canhedlaeth vndeb, tagnefedd, a chydgordio.

Nyni a attolygwn i ni em, &c.

Teilyngu o honot roddi i ni galon i'th garu, ac i'th ofni, ac i fyw yn ddiesceulus yn ol dy orchymyni on.

Nyni a attolygwn i ni em, &c.

Teilyngu o honot roddi i'th holl bobl ychwaneg o ras i wrando y

vfydd dy air, ac iw dderbyn a bur ewyllys, ac i gynhurchu ffrwythau er Yspryd.

Nini a attolygwn i ti ein, &c.

Teilyngu o honot ddwyn i'r ffordd wir bawb ar a tâth ar gyfeiliorn ac a dwyllwyd.

Nyni a attolygwn i ti ein, &c.

Teilyngu o honot nerthu y rhai sy'n sefyll, a chonfforddio a chynhorthwyo y rhai sy a gwan galon, a chyfodi y sawl a syrthiant, ac o'r diwedd curo i lawr Satan tan ein traed

Nyni a attolygwn i ti ein, &c.

Teilyngu o honot gynnorth, a helpio, a diddanu, pawb ac y sydd mewn perigl, anghenoctid, a thrwblaeth.

Nyni a attolygwn i ti ein, &c.

Teilyng-

Teilyngu o honot gadw paub a'r ſydd yn ymdaith ar for na thir, pob gwraig wrth eſcor plant, pob clwyſus a rhai bychain a thoſturio wrth bawb a ſyddo mewn caethiwed a charchar.

*Nyni a attolygwn i ti ein.* &c.

Teilyngu o honot amddiffyn ac ymgeleddu y plant amddifaid a'r gwragedd gweddwon, a phawb y ſydd yn vnic, ac yn goddef pwys plaidd orthrech.

*Nyni a attolygwn i ti ein.* &c.

Teilyngu o honot drugarhau wrth bob dyn.

*Nyni a attolygwn i ti ein.* &c.

Teilyngu o honot faddu i'n gelynion, erlynwyr, ac ſclandiwyr a throi eu calonnau.

Nyni a attolygwn i ti ein. &c.

Teilyngu o honot roddi a chadw ar ein lles, amserol ffrwythau 'r ddair, modd y caffam mewn amser dyledus eu mwynhau.

Nyni a attolygwn i ti ein. &c.

Teilyngu a honot roddi i ni wir edifeiawch, a maddu i ni ein holl bechodau, ein escculusdra an anwybod, a'n yn nyscaeddu a rhoddy Yspryd glan, i wellhau ein buchedd yn ol dy air sanctaidd.

Nyni a attolygwn i ti ein. &c.

Mab Duw, nyni attolygwn i ti ein gwrando.

Mab Duw, nyni attolygwn i ti ein, &c.

Oen Duw, yr hwn wyt yn dileu y-chodau 'r byd.

**Caniadha a i ni dy danghefedd**

Oen Duw, yr hwn wyt yn dileu pechodau 'r byd.

**Trugarha wrthym.**

Christ clwy nyni.

**Ghrist clwy nyni.**

Arglwydd trugarha wrthym.

**Arglwydd trugarha wrthym.**

Arglwydd trugarha wrthym.

**Arglwydd trugarha wrthym.**

Ein Tad yr hwn wyt yn y, &c.

**Gwersic.**

Arglwydd na wna a nyni yn ol ein pechodau. Atteb.

Ac na wobrwya ni yn ol ein anwired

**Gweddiau.**

DUW Tad trugarog yr hwn nid wyt yn dirmyga vchenaid calon gystuddiedic, nac adduned y gro-thrymedic,

medic; cynnorthwya yn drugarog ein gweddiau, yr rhai yr ym ni yn eu gwneuthur ger dy fron, yn ein trallod a'n blin fyd pa bryd bynnac y gwascant arnom; a gwrando ni yn rasusol, fel y bo i'r drygau hynny y rhai y mae hystryw a dichel diofol neu dyn yn eu gwneuthur i'n yn herbyn fyned yn ofer, a thrwy ragluniaeth dy ddaioni di, iddynt fod yn wascaredic modd na'n briwer dy weisiō drwy erlyd neb a gallu o honom bith ddiolch i ti yn dy lan Eglwys trwy Jesu Grist ein Harglwydd.

**Arglwydd cyfot, cynnorthwy ni a gwaret ni er mwyn dy Enw.**

O Duw ni a glywsom a'n clustiau, a'n tadau o fynegasant i ni, y gweithredoedd ardderchawg a wnaethost

thost yn eu dyddiau, ac yn y cynfyd o'u blen hwy.

**Arglwydd cyfot, cymmorth ni a gwaret ni er dy anrhydedd.**

*Gogoniant i'r Tad*, &c.

*Megis ydd oedd yn y*, &c.

Rag ein gelynion amddiffyn Crist

**Yn rasol edrych ar ein poenedigaethau.**

Yn desturus ystyria wrth drymder ein calonnau.

**Yn drugarog maddeu i echodau dy bobl.**

Yn garedigol gan drugaredd gwrando ein gweddiau.

**Iesu Fab Dafydd, trugarha wrthym.**

Yr awr hon a phob amser, teilynga ein gwrando O Christ.

**Yn rasol clyw ni O Christ, yn**

rasol clyw ni O Arglwydd.
Grist. Gwersic.
Arglwydd dangos dy drugaredd arnom.
Atteb.
Fal ydd ym yn ymddiried ynot.
Gweddiwn.
NYni a attolygwn i ti, O Arglwydd Dad, yn drugarog edrych ar ein gwendid, ac er gogoniant dy Enw ymchwel oddiwrthym yr hol dry ; auddarfu i ni o wir gyfiawnder eu haeddu, a chaniadha fod i ni yn ein holl drallod ddodi ein cyfan ymddiried a'n gobaith yn dy drugaredd, ac byth dy wasana ethu mewn sancteiddrwydd a phurdeb buchedd i'th anrhydedd a'th ogoniant, trwy ein vnic gyfryngwr r'n dadleu wr Jesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Gweddi tros Fawrhydi y Brenhin.*

O Arglwydd ein Tad nefol goruchel a galluoc, Brenhin y Brenhinoedd, Arglwydd yr Arglwyddi, vnic lywiawdr y Tywysogion, yr hwn wyt o'th eisteddfa yn edrych ar holl drigolion y ddaiar, ni a attolygwyn ac a ersyniwn i ti edrych o honot yn ddarbodus ar ein grasusaf ddaionus Arglwydd Frenhin *Charles* ac felly ei gyflawni ef o rad dy sanctaidd Yspryd, fel y bo iddo yn wastadol bwyso at dy fedwl, a rhodio yn dy ffordd, cynnysgaedda ef yn halaeth a doniau nefol, caniadha iddo mewn llwyddianac iechyd hir hoedl; nertha ef modd gallo orescyn a gorchfygu ei holl elynion, ac o'r diwedd yn ol y fuchedd hon, bod iddo

iddo swynhau llawenydd o dedwyddyd tragywyddol, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Gweddi dros y Tywysog â'r plant y Brenin.*

Holl allnog Dduw yr hwn a ddowaist fod yn Dad i'th etholedigion ac iw dad, yr ydym ni yn ostyngedig yn attolwg i ti, fendithio ein grasusaf frenhines *Mari*, yr Ardderchog Dywysog *Charles*, yr Arglwyddes *Mari*, *Frederic* y Tywysog Palatin, a'r Arglwyddes *Elizabeth* ei wraig a'i tywysogawll eppil: cynnyscaedda hwy a'th Yspryd glan cysocthoga hwy a'th nefol ras, llwydda hwy i'th dragywyddol deyrnas, trwy Jesu Grist en Harglwydd. *Amen.*

*Gweddi tros Fawrhydi y Brenhin.*

O Arglwydd ein Tad nefol goruchel a gollurog, Brenhin y Brenhinoedd, Arglwydd yr Arglwyddi, yr vnic lywiawdr y Tywysogion, yr hwn wyt o'th eisteddfe yn edrych ar holl drigolion y ddaiar, ni a attolygwyn ac a ersyniwn i ti edrych o honof yn ddarbodus ar ein grasusaf ddaionus Arglwydd Frenhin *Charles* ac felli ei gyflawni ef o rad dy sanctaidd Yspryd, fel y bo iddo yn wastadel bwyso at dy fedwl, a rhodio yn dy ffordd, cynnysgaedda ef yn halaeth a doniau nefol, caniadha iddo mewn llwyddianac iechyd hir hoedl; nertha ef modd gallo orescyn a gorchfygu ei holl elynion, ac o'r diwedd yn ol y fuchedd hon, bod iddo

iddo swynhau llawenydd o dedwyddyd tragywyddol, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Gweddi dros y Tywysog â'r plant y Brenin.*

Holl allnog Dduw yr hwn a ddowaist fod yn Dad i'th etholedigion ac iw had hwy, yr ydym ni yn ostyngedig yn attolwg i ti, fendithio ein grasusaf frenhines *Mari*, yr Ardderchog Dywysog *Charles*, yr Arglwyddes *Mari*, *Frederic* y Tywysog Palatin, a'r Arglwyddes *Elizabeth* ei wraig a'i tywysogawll eppil: cynnysgaedda hwy a'th Yspryd glan cysoethoga hwy a'th nefol ras, llwydda hwy i'th dragywyddol deyrnas, trwy Jesu Grist en Harglwydd. *Amen.*

HOll gyfoethog athragwyddol Dduw, yr hwn wyt yn vnic yn gwneuthur rhyfeddodau danfon i lawr ar ein Escobion a Churadiaid a'r holl gynulleidfaon a orchymmynwyd tan eu gofal hwynt iachusol Yspryd dy rad; ac fely galont wyr ryngu bodd iti tywallt arnynt ddyfal wlith dy fendith: Caniadha hyn Arglwydd, er anthydedd ein dadlouwr a'n cryfryngwr Jesu Grist. *Amen.*

## Gweddio waith Crysostom.

HOll allnog Dduw, yr hwn a roddaist ini rad y pryd hyn, drwy gytuneb a chydgyfarch i weddio arnat ac wyt yn addo pan ymgynnullo dau neu dri yn dy Enw bod i ti ganiadhau eu gofynion: cyflawna yr awr hono Arglwy, ddymuniad a deisyfiad

ad dy weision, fel y bo mwyasbuddiol iddynt gan ganiadhaui ni yn y byd hwn wybodaeth am dy wyrionedd ac yn y byd a ddaw bywyd tragywydol. *Amen.*

Rhad ein Harglwydd Jesus Grist, a serch Duw, a chymdeithas yr Yspryd glan, a fyddo gyda ni oll, bythodd. *Amen.*

## Gweddi am gael glaw pen fyddo angenrheidiol.

O Dduw nefol Dad, yr hwn drwy dy Fab Jesu Grist, a addewaist i bawb a geisio dy deyrnas a'th gyfiawnder, bob peth angenrheidiol iw cynahliaeth corphorol, danfon i ni wrth ein hangenoctid, ni a attoligwiti, gyfryw dywyd a chawodydd dymherus, modd y gallom dderbyn

ffrwythau y ddaiar, i'n mwyniant ni ac i'th ogoniant titheu, trwy Jesu Crist ein Arglwydd. *Amen.*

## Am hinon neu dywydd teg.

ARglwydd Duw yr hwn am bechod dyn a foddaist unwaith yr holl fyd oddieithr wyth dyn o bobl ac yn ol hynny o'th fawr drugaredd a addewaist na's destrywit felly byth drachefn: ni ni attolygwn i ti, er i ni am ein anwiredd haeddu y bla hon o law a dyfroedd, etto wrth ein gwir edifeirwch, danfon in i ycyfryw dywydd a hinon, fel y gallom dderbyn ffrwythau'r ddairar mewn amser dyladwy a dyscu trwy dy gospedigaeth di welhau ein bucheddau, ac am dy warder roddi i ti foliant a gogoniant, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

## Ar amser drudaniaeth a newyn.

O Dduw Tad o'r nef, drwy ddawn pa vn y discyn glaw, ac y mae y ddaiar yn ffrwythlawn, yrhilia'r anifeiliad ac yr amlha'r pyscod; edrych attolwg ar adfyd dy bobl a chaniadha am y prinder a'r drudaniaeth ydd ym ni yr awrhon yn ei ddioddefyn gwbl gyfi n am ein anwiredd, iddo drwy dy drugarog ddaioni di ymchwelyd yn rhad ac yn helaethrwydd, er cariad Jesu Grist in Harglwydd; i'r hwn gyd a thydi a'r Yspryd glan, y bo moliant yn oes oeso edd. *Amen.*

## Ar aml ser thyfel.

HOll allnog Dduw, Brenhin yr holl frenhinoedd, a phenllywi awdr pob peth, vr hwn ni ddiochon neb creadur wrthladd ei nerth, i'r hwn y perthyn

thryn o gyfiwnder gofpipechaduriaid, a bod yn drugarog wrth y rhai a fyddont wir edifeiriol: Cadw a gwaret nyni, yn oftyngedic ni attolygwn i ti rhag dwylaw ein gelynion, goftwng eu balchder dofa eu drygioni agwradwyddа au bwr adau, modd y gallom yn arfogion gan dy amddiffyndi fod byth yn gadwedic rhag pob perygl, i th ogmendu ei yr hnn wdt unic roddwr pob buddugoliaeth a goruchafiaeth. drwy haeddedigaethau yn dy Fab Jefu Grift ein Harglwydd. *Amen.*

## Yn am fer pla cyffredin neu haint cynhwynol.

HOll allnog Dduw, yr hwn yn dy lid, yn amfer y Brenhin Dafydd, leddaift a phla y' no gau dau

ddeng

ddeng mil a thri-gain mil, ac yn y man gan goffio dy drugared, a faddeuaist y lle ill::rugatha wrthym wir bechaduriaid, y rhai a ddarfu i ddirfawr haint a marwolaeth ymweled a ni fel me g:; ac y gorchymynnaist yr amser hyn ny i'th Angel beidio a chospi; felly bod yn awr yn deilwng gennit withladd odd wrthym y blâ a'r gofidus haint ymma trwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

O Dduw, yr hwn yn diau e naturiaeth a phriadoldeb yn drugarhau ynwastad, a maddeu, derbyn ein vfydd weddiau ac er ein bud ni yn rhwym gan gaethiwed cadwinau ein pecho-dau, er hynny dattoder ni gan dosturi dy drugaredd er anthydedd Jesu Grist ein Cyfryngwr a'n Dadleu wr. *Amen.*

Diolch

## Diolch am gael glaw.

O Dduw ein Tad nefol, yr hwn drwy dy rasol ragluniaeth wyt yn peri i'r glaw cynnar a'r diweddar ddiscyn ar y ddayar, fel y gallo ddwyn ffrwyth er mwyniant dyn: yr ydym ni yn rhoi i ti ostynged c ddiolchfod yn wiw genit wrth ein dirfawr anghenraid, ddanfon i ni o'r diwedd law hyfryd ar dy etifeddiaeth; a'i hireddeio pan oedd sych, yn mawr ddiddanwch ni di weision anwiw, ac i ogoniant dy sanctaidd Enw, trwy dy drugareddau; yn Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

## Diolch am dywydd teg.

O Arglwydd Dduw, yr hwn yn gyfiawn a'n drarostyng gaist ni drwy dy diweddar bla o anfeidrol

law

law a dyfroedd, ac yn dy drugaredd a gymmhorthaist ac a ddiddenaist ein heneiviau, drwy y tymmhoraidd a'r bendigedic gyfnewid ymma ar dywydd. Nyni a foliannwn ac a ogonedd wn dy fancteiddd Enw dros dy druga-redd hyn ac a ddatcanwn byth dy drugareddau, o genhedlaeth i genhedlaeth, trwy Jesu Grist ein Arglwydd. *Amen.*

## Diolch am helaethrwydd.

O Drugarogcal Dad, yr hwn o'th raslon ddaioni a wrandewaist ddefosiwnal weddiau dy Eglwys, ac a droist ein prinder ni a'n drudaniaeth yn rhad, ac yn helaethrwydd: yr ydim yn rhoi i ti ostyngedig ddiolch dros dy ragorol haelioni hynny ac yn ottolwg i ti barhau dy garedigrwydd

ymma tu ag attom, fel y rhoddo'n tir ini ei ffrwythan forchog, 'th ogoniant di a'n diddanwch ninau trwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

## Diolch am hedach a buduliaeth

HOll alluog Dduw, yr hwn wyt gadarndww'r ymddiffyn it hwersion rhag wyneb eu gelynion; yr ydym ni yn rhoddi i ti foliant a diolch am ein hymwared ni oddiwrth, y mawr a'r amling beryglon oedd i'n amgylchu: yr ydym ni yn cydnabod mai dy ddaioni di yw na n rhoddwyd ni i fynu yuysclyfaeth iddynt hwy, ac, nattolwg i ti yn wastadol burhau dy gyfrwi drugareddau tu ac attom, fel y gallo yr holl fyd wybod mai tydi yw ein hachubwr a'n cadarn-waredwr ni drwy Jesu Ghrist ein Harglwydd. *Amen.*

Diolch

# Diolch am ym wared oddi wrth bla y nodau.

O Arglwydd Dduw, yr hwn a'n harcollaist ni am ein pechodau ac a'n discaist am ein hanwireddau drwy dy ddiweddar ymweliad gorthrwm ac ofnadwy, ac etto yn ghanol dy farnedigaeth a gofiaist dy drugaredd, ac a achubaist ein heneidiau allan o fafn angau : yr ydym ni yn offrwm i'th dadol ddaioni ein hunain ein henidiau a', cyrph, y rhai a waredaist di, i fod yn aberth bywiol i ti, gan foliannu a mawrygu yn wastadol dy drugareddau yn ghanol y gennulleidfa trwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

ymma tu ag attom, fel y rhoddo'n tir ini ei ffrwythau forchog, 'th ogoniant di a'n diddanwch ninau trwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

## Diolch am hedach a budulíaeth

HOll alluog Dduw, yr hwn wyt gadarndwr'r ymddiffyn it hwersion rhag wyneb eu gelynion; yr ydym ni yn rhoddi i ti foliant a diolch am ein hymwared ni oddiwrth, y mawr a'r amling beryglon oedd i'n amgylchu: yr ydym ni yn cydnabod mai dy ddaioni di yw na n rhoddwyd ni i fynu yn yscly faeth iddynt hwy, ac, nattolwg i ti yn wastadol burhau dy gyfrwi drugareddau tu ac attom, fel y gallo yr holl fyd wybod mai tydi yw ein hachubwr a'n cadarn-waredwr ni drwy Jesu Ghrist ein Harglwydd. *Amen.*

Diolch

# Diolch am ym wared oddi wrth bla y nodau.

O Arglwydd Dduw, yr hwn a'n harcollaist ni am ein pechodau ac a'n disgaist am ein hanwireddau drwy dy ddiweddar ymweliad gorthrwm ac ofnadwy, ac etto yn ghanol dy farnedigaeth a gofiaist dy drugaredd, ac a achubaist ein heneidiau allan o safn angau: yr ydym ni yn offrwm i'th dadol ddaioni ein hunain ein henidiau a'r cyrph, y rhai a waredaist di, i fod yn aberth bywiol i ti, gan foliannu a mawrygu yn wastadol dy drugareddau yn ghanol y gennulleidfa trwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

# Neu hyn.

YR ydym ni yn ostyngedig yn cyfaddef ger dy fron di o drugaroccaf Dad, y galasci yr holl gospedig aethau a fygythir yn dy gyfraith, yn gyfiawn ddiscyn arnom ni, o herwydd ein haml drosseddau a chaledwch ein calonanu: Etto gan fodd yn vvivv gennit o'th dyner drugaredd ar ein gwan a'n anhelivvng ymddarostyngiad ni, esmvvythau y pla ni y veidiol, a'r hvvn yn ddivveddar i'n cystuddevvydd, ac edfryd llesgorfoledd at fechydwriaeth yn ein cyfanneddau, yr ydym ni yn offrwm i'th dduvviol favvredd, aberth moliant a diolch, gan glodfori a mavvrigu dy ogoneddus Envv o hervvydd dy ymgeledd a'th ragddarbodaeth drosom, trvvy Iesu Grist

Grist ein Harglwydd, *Amen.*

*Diwedd y Letany.*

*Prydnhawnol weddi.*

Megis o flaen Boreol weddi, felly o flaen Prydnhawnol weddi, dechreuer rhai o'r sentensiau, ac yna diweder y Gyffes Gyffredin, a'r weddi sy ar ei hol, a chwedi hynny.

EIn Tad ni yr hwn wyt yn y nefoedd, *&c.*

Arglwydd egor ein gwefusau.

A'n genau a fynega dy foliant.

Duw brysia i'n cynnor thwyaw.

Arglwydd prysura i'n cymmorth

*Gogoniant i'r Tad,* &c.

*Megis yr oedd yn y* &c.

*Molwch yr Arglwydd.*

## Confitebor tibi. Psal. 111.

CLonforaf yr Arglwydd am holl galon, ynghymmanfa y rhai vniawn, ac yn y gynnulleidfa

Mawr yw gweithredoedd yr Arglwydd: wedi eu ceisio gan pawb a'i hoffaant.

Gogoniant a hardwch yw ei waith ef: a'i gyfiawnder fydd yn parhau byth.

Gwnaeth gofio ei ryfeddodau: grasflawn a thrugarog yw'r Arglwydd.

Rhoddodd ymborth a'r rhai a'i hofnant ef: efe a gofia ei gyfammodd yn dragywydd.

Mynegodd i'w bobl gadernid ei weithredoedd: i roddi iddynt etifeddiaeth y cenhedloedd.

Gwirionedd a barn yw gweithredoedd

doedd ei ddwylaw ef : ei holl orchommynion ydynt ſicer.
Wedi eu ſicerhau byth ac yn dragywidd : a'i gwneuthur mewn gwirionedd ac vniawnder.
Anfonodd ymwared i'w bobl, gorchymmynodd ei gyfammod yn dragywyddol : ſancteiddiol ac ofnadwy yw ei Enw ef.
Dachreuad doethineb yw ofn yr Arglwydd : deall da ſydd gan y rhai a wnant ei orchymminion ef : y mae ei foliant ef yn parhau byth,

Beatus vir. Pſal. 112.

GWyn ei ſyd y gwr a ofna 'r Arglwydd : ac ſydd yn hoffi ei orchymmynion ef on ddirfawr.
Ei had ſydd cadarn ar y ddaiar : cenhedlaeth y rhai vniawn a fendithir.

Golud a chyfoeth ſydd yn ei dy ef a'i gyfiawnder ſydd yn parhau byth.

Cyfyd goleuni i'r rhai vniawn yn y tywyllwch : trugarog, a thoſturiol, a chyfiawn yw efe.

Gwr da ſydd gymmwynaſgar, ac yn rhoddi benthyg : wrth farn y llywodraetha efe ei achoſion.

Yn ddiau nid yſcogir ef byth : y cyfiawn ſydd byth mewn coffadwriaeth.

Nid ofna efe rhac chwedl drwg : ei galon ſydd ddiſigl, yn ymddiried yn yr Arglwydd.

Attegwyd ei galon : nid ofna efe hyd oni weloy ewyllys ar ei elynion.

Gwaſgarodd, rhoddodd i'r tlodion, a'i gyfiawnder ſydd yn parhau byth: ei gorn a ddyrchefir mewn gogoniant.

Yr annuwiol a wel hyn, ac a ddigia efe ysgyrnyga ei ddaunedd, ac a dawdd ymaith: derfydd am ddymuniad y rhai annuwiol.

*Gogoniant i'r Tad*, &c.

*Megis yr oedd yn y*, &c.

**Y Lith gyntaf a dynnwyd allan o'r bennod gynta o'r Diharebion Solomon.**

Doethineb sydd yn gweiddi oddiallan, y mae hi yn adrodd ei lleferydd yn yr hoelydd. Y mae hi yn llefain yw mhrif leoedd y dorfa, yn drysau y pyrth: yn y ddinas y mae hi yn traethu ei hymadroddion, gan ddywedyd. pa hid, chwi ynfydion, y cerwch ynfydrwydd? a chwi watwarwyr, y byde hoff geanych wat-

war, ac y casa ffyliaid wybodaeth? dychwelwch wrth fyngherydd: wele mi a dywalltaf fy yspryd i chwi, fyngeiriau a yspyfaf i chwi. Yn gymmaint ac i mi eich gwahodd, ac i chwithau wrthod; i mi ystyn fy llaw a neb heb ystyried: ond dyistyrasoch fy holl gyngor i, ac ni fynnech ddim om cerydd; minnau hefyd a chwarddaf am eich dialedd chwi, mi a wawdiaf pan syrthiad arnoch yr hyn yr ydch on ei ofni. Pan ddel arnoch yr hyn ydych yn ei ofni megis cowynt, a dyfod arnoch wasgfa a chaledi: yna y galwant arnaf, on'd ni warandawaf; yn fore i'm ceisiant, on'd ni'm cant. Canys cas fu ganddynt wybodaeth, ac ofn yr Arglwydd ni ddewisasant. Ny chymmerent

merent ddim o'm cyngor i, ond dirmygasant fy holl gerydd.

## Magnificat anima. Luc. 1.

FY enaid a fawrhao yr Arglwydd a'm hysbryd a lawenyhodd yn Nuw fy Iachawdur.

Canys efe a edrychodd : ar ostyngeiddrwydd ei wasanaethyddes.

Oblegid wele o hin allan : yr holl genhedlaethau a'm galwant yn wynfydedig.

Canys yr hwn sydd alluog a wnaeth i mi fawredd : sanctaid yw ei enw ef.

A'i drugaredd sydd yn oes oesoedd ; ar y rhai a i hofnant ef.

Efe a ddangosodd nerth a'i fraich: efe a wasgarodd y rhai beilchion ym mwriadau eu calonnau.

Efe a dynnodd i lawr y cedyrn oi heiſteddfaou : ac a ddyrchafodd y rhai iſelrad.

Efe a lanwodd y rhai newynog a phethau da : ac a anfonodd ymaith y rhai goludog mewn eiſiau.

Efe a gynnorthwyodd ei was Iſrael, gan gofio ei drugaredd; (fel y dywedodd wurth ein tadau, Abraham a'i had) yn dragywydd.

*Gogoniant i'r Tad*, &c.

*Megis yr oedd yn y*, &c.

## Neuyntau y Psalm hon.

*Cantate Domino*. Pſal. 98.

CEnwch i'r Arglwydd ganiad newydd, canys efe a wnaeth bethau rhyfedd : a'i ddeheulaw, ac a'i fraich ſanctaid y parodd iddo ei hun Iachawdwriaeth. Yſ-

Yſpyſodd yr Arglwydd ei Jachaw-dwriath : a datgiddidd i gyſiawnder yngolwg y cenhodlodd.

Cofiodd ei drugared , a'r wirionedd i dy Iſrael ; a holl derfynau y ddair a welſant Jachawdwriaeth ein Duw ni.

Cenwch yn llafar i'r Arglwydd yr holl ddaiar:llefwch,ac ymlawenhewch, a cenwch.

Cenwch i'r Arglwydd gydda'r delyn : ſef gyda'r delyn a llef cane moliant.

Cenwch yn llafar o flaen yr Arglwydd y Brenhin,ar yr Virgin,a ſain trwmnet.

Roued y mor, ac ſydd ynddo : y byd a'r rhai a drigant o'i fewn.

Curedd y llifeiriant eu dwylo : a

chyd

chydganed y mynyddoedd o flaen yr Arglwydd, canys efe a ddaeth i farnu y daiar.

Efe a farn y byd mewn cyfiawnder; ar bobloedd mewn vniondeb.

*Gogoniant i'r Tad*, &c.

*Megis ydd oedd yn y*, &c.

## Yr epistl a dynnwyd allan o'r 12 bennod at y Rhufeiniaid.

YY wyf yn attolwg i chwi frodyr er trugareddau Duw, roddi o honoch eich cyrph yn aberth byw, sanctaidd, cymmeradwy gan Dduw; yr hyn yw eich rhesymmol wasanaeth chwi: Ac na chyd ymffurfiwch a'r byd hwn, eithr ymgyfnewidiwch trwy adnewyddiad eich meddwl, fel y profoch beth yw daionus, a chym-

chymmeradwy a pherffaith ewyllys Duw. Canys yr wyf yn dywedyd, trwy y gras a roddwyd i mi, wrth bob vn sydd yn eich plith, na byddo i neb uchel synied yn amgen nag y dylid synied, eithr synied i sobrwyd, fel y rhannodd Duw i bob vn fesur ffydd, Canys megis y mae gennym aelodan lawer mewn vn corph, ac nad oes gan yr holl aelodau yr vn swydd, felly ninnau a ni yn llawer, ydym vn corph yn-ghrist, a phob vn en aelodau iw gilydd.

Nunc dimittis. Luke 2. 29.

YR awr hon Arglwydd gollyngi dy was mewn tangnhefydd, yn ol dy air.

Canys fy llygaid a welsant dy Jachawdwriaeth.

Yr hon a barotoaist gar bron wyneb yr holl bobl.

I fod yn olenni i oleud y Cenhedloedd, ac yn ogoniant i'th bobl Israle.

*Gogoniant i'r Tad*, &c.

*Megis ydd oedd yn y*, &c.

Neu'r Psalm. 67.

*Deus misereatur nostri.*

DUw a drugarhao wrthym, ac a'd bendithio, a ynned llewyrch ei wyneb arnom, a thrugarhaed wyr thym.

Fel yr adwaoner dy ffyrd ar y ddair, a'th iachadwriath ym mhlith yr holl genhedloedd.

Molianned y bobl di, O Dduw, molianded yr holl bobl dydi.

Llawen-haedd y cenhedloedd, a byddant

byddant hyfrid: cany tydi a ferni y bobl yn vniawn, ac a lywodraethi y cynhedloedd ar y ddaiar.

Molianned y bobl di o Dduw: molianned yr holl bobl dydi.

Yna'r ddaiar a rydd ei ffrwyth: a Duw, sef ein Duw ni, a'n bendithia.

Duw a'n bendithia: a holl dderfynau yr ddaiar a'i hofnant ef.

*Gogoniant i'r Tad*, &c.

*Megis ydd oedd yn y*, &c.

## Y Collect o'r dydd.

## Yna dyweder y Collect am Heddwch.

DUw oddiwrth ba un y daw pob eidduned sanctaidd, pob cyngor da, a phob gweithred gyfiawn, dyro i'th wasanaeth ddynion y rhyw

daugnhefedd ar na ddichon y byd ei roddi, modd y gallon ein calonnau ymroi i v fuddhau i'th orchymmynyni-on; a thrwy dy amddiffyniad i ni rhac ofn ein gelynion allu o honom dreulio ein hawser mewn heddwch a thaugnhefedd, drwy haeddwigaethu Jesu Grist ein Jachawdur. *Amen.*

## Gwydditros y Brenhin.

O Drugarogoaf Dad, yr ydym ni i gyd dy weision o wir ddyled, a'th blant drw ras, yn ysudd ddeisyfu arnat gadw dy fab Charles ein Brenhin an llywydd O Arglwydd daionus hain had rhinweddi ynddo ef, fel y bo i'r deyrnas hon lawer o ffynyddoedd swynhau aml ffrwyth dy rad a'th fendith di arno ef, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

Dros

## Dros vn a fo altf.

GWrando ni holl gyfoethog a thrugarogcaf Dduw yr Jachawdwr, estyn dy arferedig ddaioni i'th wasanaethwr yma sydd ofidus gan ddolur: ymwel ag ef, Arglwydd megis yr ymwelaist a mam gwraig Petr, ac a gwas y capten: felly ymwel a'r claf hwn, dyro iddo ei gynnefin iechyd, os dy ewyllis di yw hynny, ac onid e dyro iddo ras i gymmeryd felly di ymweliad, fel y bo iddo yn ol diweddu y fuchedd boenedig hon, allu trigo gyda thi yn y fuchedd dragwyddol.

## Y trydydd Colect am ymwared yn erbyn pob perygl.

GOleua ein tywyllwch, ni a attolygwn i ti O Arglwydd, a thrwy

thrwy dy fawr drugared amddiffyn ni rhag pob peryl ac enbydrwydd y nos hon, er serch ar dy un Mab ein Jachawdwr Grist. *Amen.*

Caniadha i ni Arglwydd, ni a attolygwn i ti, yr yspryd i fed dul ac i wneuthur byth y cyfryw bethau ac a fo cyfiawn; fel y byddo i ni, y rhai ni allwn fod hebot ti, allu trwthot i fyw yn ol dy ewyllys trwy Jesu Grist ein Aarglwydd. *Amen.*

## Y viii Psalm.

TAngnefydd Dduw yr hwn sydd vch law pob deall, a gatwo eich calonnau a'ch meddyliau yngwybodath a chariad Dduw, a'i Fab Jesu Grist ein Harglwydd. A bendith Dduw Hollalluog, y Tad, y Mab, a'r Yspryd glan, a fyddo i'ch plith, ac a drigo gyda chwi yn wastad. *Amen.*

*Y may terfy na Boreol a Phrydnhawnol weddi.*

## Saith Psalm Edeseirwch.

*Domine ne furore.*

ARglwydd na cherydda fi yn dy lidiagwrwydd, ac na chospa fy dy lid.

Trugarha wrthyf Arglwydd, canys llosg ydwyfi : iacha fi O Arglwyyd, canys fi esgyrn a gystuddiwyd.

A'm henain a ddychrynwydd yn ddiyfawr, tithau Arglwydd, pa hye?

Dychwel Arglwydd, gwared fy enaid : achub fi er mwym dy drugared.

Canys yn angau nid oes coff am danat : yn y bedd pwy athfolianna.

Diffygiais gan fy ochain; bob nos yr ydwys yn gwneuthur fy ngwely yn foddfa: yr ydwyfi'n gwlychu fy ngorweddfo am dagrau.

Treuliodd fy llygad gan ddigter: heneiddiadd o harwyyd fy holl elynion.

Ciliwch oddiwrthyf holl weithredwyr anwiredd: canys yr Arglwydd a glywodd lef fy wylofain.

Clybu'r Arglwydd fy neifyfiad: yr Arglwydd a dderbyn fy ngweddi.

Gradwydder, a thralloder yn ddirfawr fy holl elynion: dychweler, a chywilyddeier hwynt yn ddifymmwth.

*Beati quorum*. Pfal.32.

GWyn ei fyd y neb y maddeuwyd ei drofedd: ac y cuddiwid ei bechod.

Gwyn

Gwyn ei fyd y dyn ni chyfrif yr Arglwydd iddo anwiredd : ac ni bo dichell yn ei yspryd.

Tray tewais, heneiddiodd fy esgryn : gan fy rhuad ar hyd y dydd.

Canys trymhaodd dy law arnaf dydd a nos : fy irder a drowyd yn sychder haf.

Addefais fy mechod wrthyt, a'm hanwiredd ni chuddiais : dywedais, cyffesaf yn fy erbyn fy hun fy anwireddau i'r Arglwydd, a thi a faddeuaist anwiredd fy mhechod.

Am hyn y gweddia pob duwiol arnat ti yn yr amser i'th gaffer : yn ddiau yn llifeiriant dyfroedd mawrion, ni chant nessau atto ef.

Ti ydwyt loches i mi; cedwi fy rhag ing : amgylchyni fy, a chaniadau ymwared,

Cyſarwyddaf di, a dyſgaf di yn y ffordd yr elych : a'm llygad arnat i'th gynghoaf.

Na fyddwch fel march, neu fe, heb ddeall : yr hwn y mae rhaid attal ei en a genia ac a ffrwyn, rhag eiddioneſſau attat.

Goſidiau lawer fydd i'r annuwiol : ond y neb ymddiried yn yr Arglwyd, trugared a'i cylchyna ef.

Y rhai cyfiawn byddwch lawen a hyfryd yn yr Arglwydd : ar rhai uniawn a galon oll cenwch yn llaſar.

*Domine ne in furore.* Pſal 38.

ARglwydd, na cheryddy fi yn dy lyd : ac na choſpa fi yn dy ddigllonedd.

Canys y mae dy ſaethau ynglyn ynof

ynof: a'th law yn drom arnaf.

Nid oes Jechyd yn fy nghnawg o herwydd dy ddigllonedd: ac nid oes heddwch i'm heſgryn oblegid fy mechod.

Canys fy nghamweddan a aethant dros fy mhen megis balch trwm y maent yn rhy drwm imi.

Fy nghleiſiau a bydraſant: ac a lygraſant gan fy ynſydrwydd.

Crymmwyd a daroſtyngwyd fi yn ddirfawr: beunydd yr ydwyf yn myned yn alarus.

Canys fy lwynau a lanwyd o ffieddglwyf: ac nid oes iechyd y fy nghawd.

Gwanhawd, a drylliwyd fi yn dramawr: rhuais gan aſlonyddwch fy nghalon.

O th flaen di Arglwydd, y mae fy holl ddymuniad : ac ny chuddiwyd vchenaid oddiwrthyt.

Fy nghalon fydd yn lyammu, fy nerth a'm gadawodd : a llewyrch fi llygad nid yw ychwaith gennif.

Fy ngharedigion a'm cyfeillion a fafent oddiar gyfer fymhla : a'm cyf-nefeifiaid a fatent o hirbell.

Y rhai hefyd a geifient fy einioes a ofodafant faglau : a'r rhai a geifient fy niwedd a draethent anwiroddau, ac a dychymmygent ddichellion ar dyd y dydd.

A minnau fal byddar ni chlywn : eithr oeddwn fal mudan heb agoryd ei enau

Felly 'roeddwn fol gwr ni chlywai:

ae

ac heb argyoeddion yn ei enau.
O herwydd i'm obeithio ynot Arglwydd : ti Arglwydd fy Nuw a wrandewi.
Canys dywedais gwrando fi rhag llawennychu o honynt i'm herbyn : pan lithrei fy nhroed ymfawrygent i'm herbyn.
Canys parod wyfi gloffi : a'm dolur sydd ger fy mron yn wastad.
Pan y mynegaf fy anwiredd : ac yn gedyrn : amlhawyd hefydd y rhai i'm caffaant ar gam.
A'r rhai a dalant ddryw dros da, a'm gwrthwynebant : am fy mod yn dilyn daioni.
Na ad fi, O Arglwydd : fy Nuw, nac ymhellha oddi wrthyf.
Brysia i'm cymmorth : O Arglwydd

wydd fy iachawdwriaeth.

*Miserere mei*, Psal.

TRugatha wrthyf O Dduw yn ol dy drugaregrwydd : yn ol lliaws dy dosturiaethau, dileafy anwireddau.

Golch fi yn llwyr ddwys oddiwrth fy anwiredd : a glanha fi oddiwryth fy mhechod.

Canys yr wyf yn cydna bod fy nghamweddau a'm pechod sydd ym wastad gersy niron.

Yn dy erbyn di, dyddi di hunain, ypecais, ac y gwneuthum y drwg hyd yn dy olwg : fel i'th gyfiawnhaer pan leferych, ac byddit bur pan farnech.

Wele mewn anwiredd i'm llunniwyd

wyd : ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf.

Wele, ceraist wirioned oddi mewn a pherii mi wybod doethineb yn ddirgel.

Glanha fi ag Yssop, ac mi a lanheir : golch fi, a byddaf wynnach na'r eira.

Par i mi glywed garfoled, a llawenydd : fell y llawenycho yr esgyrn a ddrylliaist.

Cudd dy wyneb oddiwrth fy mhechodau : a dilea fy holl anwireddau.

Crea galon lan ynof o Dduw, ac adnewyddo yspryd vniawn o'm mewn.

Na fwrw fi ymaith oddi ger dy fron : ac na chymmer dy Yspryd sanctidd oddiwrthyf.

Dyro

Dyro drachefn i mi orfoledd di iachadwwriaeth : ac a'th hael yſpryd cynal fi.

Yna y dyſgaf dy ffyrd i rhai anwir; a phechaduriaid a droir attat.

Gwared fi oddiwrth waed , O Dduw , Duw fy iachawdwriaeth : a'm tafod a gan yn llafar am dy gyfiawnder.

Arglwydd agor fy ngwefuſau: a'm genau a fynega dy foliant.

Canys ni chwennychi aberth , pe amgen mi rhoddwn : poethoffrwm ni fynni.

Aberthau Duw ydynt yſpryd drylliedig, calon ddrylliog gyſtuddiedig O Dduw, ni ddirmygi.

Gwna ddaioni , yn dy ewyllyſgarwch i *Sion* : adeilada furiau *Jerusalem.*

Yna

Yna y byddi fodlon i abyrth cyfiawnder, i boeth offrwm ac abyrth llosg: yna'r offrymmant fuſtych ar dy allor.

*Domine exaudi.* Pſal. 102.

ARglwydd clyw fy ngweddi: deled fy llef attat.

Na chudd dy wyneb oddiwrthyf, yn nydd fy nghyfyngder goſtwng dy gluſt attaf: yn y dydd y galwyf, bryſia, gwrando fi.

Canys fy nyddia a ddarfuant fel mwg: a'm heſgyrn a boethaſant fel aelwyd.

Fy nghalon a darawyd, ac a wywodd fel llyſieuyn: fel yr anghofias fwytta fy mara.

Gan lais fy nhuchan: y glynodd fy eſgyrn wrth fy nghnawd.

wydd fy iachawdwriaeth.

*Miserere mei*, Psal.

TRugatha wrthyf O Dduw yn ol dy drugaredgrwydd : yn ol lliaws dy dosturiaethau, dileafy anwireddau.

Golch fi yn llwyr ddwys oddiwrth fy anwiredd : a glanha fi oddiwryth fy mhechod.

Canys yr wyf yn cydna bod fy nghamweddau a'm pechod sydd ym wastad gersy niron.

Yn dy erbyn di, dyddi di hunain y pecais, ac y gwneuthum y drwg hyd yn dy olwg : fel i'th gyfiawnhaer pan leferych, ac byddit bur pan farnech.

Wele mewn anwiredd i'm lluniwyd

wyd : ac mewn pechod y beichio-
godd fy mam arnaf.

Wele, ceraiſt wirioned oddi mewn
a pherii mi wybod doethineb yn
ddirgel.

Glanha fi ag Yſſop, ac mi a lan-
heir : golch fi, a byddaf wynnach
na'r eira.

Par i mi glywed garfoled, a lla-
wenydd : fell y llawenycho yr eſgyrn
a ddrylliaiſt.

Cudd dy wyneb oddiwrth fy,
mhechodau : a dilea fy holl anwired-
dau.

Crea galon lan ynof o Dduw, ac
adnewyddo yſpryd vniawn o'm
mewn.

Na fwrw fi ymaith oddi ger dy
fron : ac na chymmer dy Yſpryd
anctidd oddiwrthyf.

Dyro drachefn i mi orfoledd di iachadwwriaeth : ac a'th hael yspryd cynal fi.

Yna y dysgaf dy ffyrd i rhai anwir: a phechaduriaid a droir attat.

Gwared fi oddiwrth waed , O Dduw , Duw fy iachawdwriaeth : a'm tafod a gan yn llafar am dy gyfiawnder.

Arglwydd agor fy ngwefusau: a'm genau a fynega dy foliant.

Canys ni chwennychi aberth , pe amgen mi rhoddwn : poethoffrwm ni fynni.

Aberthau Duw ydynt yspryd drylliedig, calon ddrylliog gystuddiedig O Dduw, ni ddirmygi.

Gwna ddaioni , yn dy ewyllysgarwch i Sion : adeilada furiau *Jerusalem.*

Yna

Yna y byddi fodlon i abyrth cyfiawnder, i boeth offrwm ac abyrth llosg: yna'r offrymmant fustych ar dy allor.

*Domine exaudi.* Psal. 102.

ARglwydd clyw fy ngweddi: deled fy llef attat.

Na chudd dy wyneb oddiwrthyf, yn nydd fy nghyfyngder gostwng dy glust attaf: yn y dydd y galwyf, brysia, gwrando fi.

Canys fy nyddia a ddarfuant fel mwg: a'm hesgyrn a boethasant fel aelwyd.

Fy nghalon a darawyd, ac a wywodd fel llysieuyn: fel yr anghofias fwytta fy mara.

Gan lais fy nhuchan: y glynodd fy esgyrn wrth fy nghnawd.

Tebyg wyf i belican yr anialwch : ydwyf fel darlluan y diffaithwch.

Gwillais, ac ydwyf fel aderyn y to, vnig ar ben y ty.

Fy nghelynion a'm gwradwyddant beunydd : y rhai a ynfydant wrthyf a dyngasant yn fy erbyn.

Canys bwytteais ludw fel bara : a chymmyſgais fy niod a wylofaint.

O herwydd dy lid di a'th ddigofaint : canys codaiſt fi i ſynu, a theflaiſt fi i lawr.

Fy nidiau ſydd fel cyſgod yn cylio: a minnau fel glaſwelltyn a wywais.

Tithau Arglwydd a barhei yn dragywyddol : a'th goffadwriaeth hyd genhedlaeth a chenhedlaeth.

Ti a gyfodi, ac a drugarhei wrth Sion : canys yr amſer i drugarhau wrthi,

wrthi, felyr amser nodedig a ddaith.
Oblegid y mae dy weision yn cossi ei meini: ac y dosturia wrth illwch hi.
Felly y cenhedloedd a ofnant Enw'r Arglwydd: a holl frenhinoedd y ddair dy ogoniant.
Pan ade iladd y'r Arglwydd *Sion*: y gwelir ef yn ei ogoniant.
Efe a edrych arweddi y gwael: ac ni ddiyst yrodd ei dymuniad.
Ayn a ysgrifennir i'r genhedlaeth a ddel: a'r bobl a greir a foliannant yr Arglwydd.
Canys efe a edrichodd o'r vchelder ei gyssegr: yr Arglwydd a edrichodd o'r nefoedd ar y ddaiar.
I wrando vchenaid y carcharorion ac i ryddhau plant angau.

I ſynegi Enw yr Arglwydd yn *Si-on*: a'i foliant yn *Jeruſalem*.

Pan gaſgler y bobl ynghyd : a'r teyrnaſoed i waſanaethu'r Arglwydd

Goryſgodd efe fy nerth ar y ffordd : byrhaodd fy nyddiau.

Diwedais, fy Nuw na chymmer fi ymaith ynghanol fy niddiau : dy flynyddoedd di ſyd yn oes oeſoedd.

Yn y decerenad ſeiliaiff y ddaiar : a'r nefoedd ydynt waith dy ddwylau

Hwy a ddarfyddant, a thi a barhei, ie hwynt oll a heneiddiant fel dilledyn : fel gwiſg y newd ihwynt a hwy a newidir.

Tithau'r vn ydwyt : a'th flynyddoedd ni ddarfydant.

Plant dy weiſion a barhaent a'i had a ſicerheir ger dy fron di.

*De profundis clamavi.* Psal. 130.

OR dyfnder y llefais arnat, O
Arglwydd.
Arglwydd clywfy llefain: ystyried
dy glustiaw wrth llef fy ngweddiau.
Os creffi ar anwireddau Argl-
wydd: O Arglwydd, pwy a saif.
Onid y mae gydat hi faddeuant,
fel i'th ofner.
Disgwiliaf am yr Arglwydd disg-
wil fy enaid: ac yn ei air ef y gober-
thiaf.
Fy enaid sydd yn disgwil am yr Ar-
glwydd, yn fwy nag y mae yr gwil-
wyr am y bore: a'herwydd y mae
trugared gyda'r Arglwydd, ac aml-
ymwared gygag ef.
Ac efe a wared Israel, oddiwrth
ei holl anwireddau.

*Domine exaudi.* Psal. 143.

ARglwydd clyw fy ngweddi, a gwrandi ar fy neisyfiadau: erglyw fi yn dy wirionedd, ac yn dy gyfiawnder.

Ac na ddos i farn a'th was: o herwydd ni chyfiawndheir neb bwy yn dy olwg di.

Canys o gelyn a erlidiodyn fy enaid, curodd fy enaid i lawr: gwnaeth i mi drigo mewn ty wyllwch, fel y rhai a fu feirw er y stalm.

Yda y pallodd fy y sprydo'm mewn: ac y fannodd fyinghalon ynof.

Cofias y dyddiau gynt myfyrieis ar dy holl waith: ac yngweithredodd dy ddwylo y myfyriaf.

Lledais fy nwylaw attat: fy enaid feltir sycedig sydd yn hiraethu am danat

Oh

Oh Arglwydd gwrando fi yn ebrwydd : dallod fy yſpryd, na chud dy wyneb oddiwrthyf, rhag ſy mod yn gyffylib i'r rhai a ddiſgynnant i'r pwell.

Par i mi glywed dy drugarowgrwydd y bore, o herwyd ynot ti y gobeithiaf: par i mi wybod yfford y rhodywyf, oblegid attat ti y detchaia fy enaid.

Gwared fi oddiwrth fy tngelynion O Arglwydd : gyda thi yr ymguddiais.

Dyſg i mi wneuthur dy ewyllys di, canys ti yw fy Nuw : ty wiſed dy yſpryd daionus fi i dir uniondeb.

Bywha fi O Arglwydd, er mwyn dy Enw, dwg fy enaid allan o ing, er mwyn dy gyfiawnder.

Ac er dy dragaredd, distria fy ngelynion, a difetha holl gystudd-wyr fy enaid: oblegid dy was dy wyfi.

*Gogoniant i'r Tad,* &c.
*Megis ydd oedd yn y,* &c.

*Yr Anthem.*

NA chofia Arglwydd, ein anwiredd, rhaglaened dy drugaredd ni ar frys, canys truain iawn ydym: cynnorthwa ni o Dduw: ein Iachawdr, ac er gogoniant di Enw gwared ni: bydd drugarog wrthum ac er mwyn dy Enw maddeu i ni ein pechodau. Na ad ir annuwiol dyd-wedyd. Pa le y mae eu Duw hwynt. Dy bobl di ydw ni, a defaid dy

bor

borfa, i ti y diolchwn yn dragywydd O oes i oes y mynegwyn dy foliant o'th glodforedd. I ti y bytho'r moliant a'r gogoniant byth ac yn dragywydd, *Y ma terfyna y vii Psalm.*

---

*Collectau a dynnwydd allan o'a Llyfr gweddi gyffredin, i'w dywedyd bob dydd yn yr wythnos, O flaen y collectau eraill sy yn niwedd Boreol a Phrydnhawnol weddi.*

HOll-alluog a thrugarog Dduw, a hodd pwy yn yn vnig y daw, bod i'th ffyddlon bobl dy wasanaethu yn gywir ac yn fawledig: Caniadha, ni a erfyniwn i ti, ally o honom redeg at dy nefol addewidion, megis

na phalle gennym, ny y diwedd en mwynhau : trwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Ar Ddie Llun.*

HOll alluog a thragywyddol dduw yr hwn yn wastad wyth barottach i wrando na nyni y wed-dio ac wyt arferol n roddy mwy nag a archom, neu a ryglydaom: tywallt arnom amlder dy drugaredd, gan faddeu i ni cyfryw bethau ac y mae ein cydwybod yn eu hofni a rhoddi i mi y pethau ni feiddia ein gweddi eierchi : trwy Jesu Grist en Hargl-wydd. *Amen.*

*Ar Ddie Mawrth.*

DUw, yr hwn a athwyaest i'r rhai a'th garant gyfryw bethau daio-

daionus ac y ſydd ych ben pob deall dyn, tywallt i'n calonnau gyfryw ſerch arnat, fel y byddo i mi gan dy garu ym mbob rhyw beth allu mwynhau dy addewidion, y rhai ſy ſwy rhagorol na dim fedrom ni ei ddeiſyf: trwy Jeſu Griſt ein Harglwydd. *Amen.*

*Ar Ddie Mechur.*

DUw, yr hwn wyt wir nerth i bawb oll ac y ſy yn ymddiried ynot, yn drugarog derbyn ein gweddiau: a chan na ddichon gwendid ein marwol anian wneuthur dim da hebot ti, Caniadhaha i ni gymmorth dy nefol rad, el y bo i ni gadw dy orchymynion, ryngu bodd i ti ar ewyllys a gweithrhed: trwy Jeſu Griſt ein Arglwydd. *Amen.*

*Ar Ddie Iou.*

HOllgyfoethog Dduw, yr hwn wyt yn gwneuthur Meddyliau yr holl ffyddloniaid i fod o vn ewyllys : Caniadha i'th bobl, fod ydynt garu yr hyn yr wyt yn ei orchymmyn, a deisyfu yr hyn yr wyt yn ei addo, fel ym mhlith amrafael ddam weiniau 'r byd, allu o'n calonnau gwbl arhos yn y lle y mae gwir lawennydd i'w gaeffael, trwy Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Ar Ddie Gwener.*

O Arglwydd, yr hwn wyt yn dysgu i ni na thal dim ein holl weithredoedd heb gariad perffaith : anfon dy Yspryd glan, a thywallt yn ein calounau ragorol ddawn cariad perffaith, gwir rwymyn tangnefedd

a holl rinweddau da, heb yr hwn bynnag sydd yn byw a gyfrifir yn farw ger dy fron di; Caniadha hyn er mwyn dy vu Mab Jesu Grist. *Amen.*

*Angwhaneg o'r un Collectau.*

HOll-alluog a thragywyddol Dduw edrych yn drugarog ar ein gwnedid: ac yn ein holl beryglon a'n anghenion, ystyn dy ddeheulau i'n cymmorth ac i'n amddiffyn, trwy Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Un ar all.*

DUw, yr hwn a wyddost ein bod ni wedi ein gosod mewn cymmaint a chynnifer o beryglon, ac na'[...] gallom o herwydd ein gwendid dynol, sefyll bob amser yn uniawn[...]

niadha i ni iechyd enaid a chorph
el y bo am yr holl bethau ydd ym
ni yn eidioddef am bechod, allu o
honom drwy dy borth di eu gorfod
a'i gorchfygu, trwy Jesu Grist ein
Aarglwydp. *Amen.*

*Un arall.*

O Arglwydd Dduw, yr hwn a
weli nad ydym ni yn ymddi-
red mewu weithred a wnelom, Ca-
niadha drugarog fod i ni drwy dy
nerth, gael ein hamddiffyn rhag pob
gwrthwyneb trwy Jesu Grist ein
Harglwydd. *Amen.*

*Un arall.*

Holl-alluog Duw, yr hwn ni cha-
shei ddim ar na wnaethok, ac
faddeui bechodaw pawb y sy edi-
riol, Crea a gwna ynom newydd
ddyledus

ddyledus a drylleidig galon; fel y bo i ni gan ddyledus ddoluriaw am ein pechodau, a chyfaddeu ein trueni, allu caffael gennyt, Dduw yr holl drugaredd gyflawn faddeuaint a gollyngdod, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Un arall.*

NI a attolygwn i ti, Hollalluog Dduw, edrych o honot ar ddeisyfiadau dy ufudd weision, ac ystyn ddeheulaw dy fawrhydi i fod yn ymwared i ni yn erbyn ein gelynion, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

ARglwydd ni a attolygwn i ti yn drugarog ein gwrando, ac megis y rhoddaist i ni feddwl fyw calon i weddio, caniadhau drwy

fawr nerth i ni gael e in hamddiffyn, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*O weddi dra duwiol, gymmwys i'w harfer gan bob Christion.*

O Rel ddaionus Jesu, O Jesu ddg, O Jesu Faby Fair forwyn, llawen trugyredd a gwirioned: o deg Jesu, yn ol dy fawr drugaredd, trugarha wrthyf: O ddaionus Jesu, yr wyf yn attolwygi ti er mwyn dy werthfawr waed y buost-fodlon i'w gollia ar allor y groes et ein mwyn ni bechaduriaid truain, fod yn wiw gennnyt olchi ymaith yn llwyr fy holl anwireddaui, ac na'm dirmygych, a minnau fel hyn yn ostyngedig ddeisyfu arnat, ac yn galw ar dy sanct sancteiddiaf Enw Jesu. Yr Enw yma Jesu sydd Enw peraiddwych. Yr Enw yma Jesu sydd Enw Jachawdwriaeth. Oblegid beth yw Jesu ond Jachawdur? O ddaionus

Jesu

Jesu, tydi a'm creaist i, ac a'm prynaist â'th werthfawr waed. Na ad i mi fyned yn golledig, a thithau wedi fy ngwneuthur i o ddiddim dunydd: O ddaionus Jesu, na ad i'm hanwired fy nistriwio, a thithau wedi fy ngwneuthur i o'th oll alluog ddaioni. O ddaionus Jesu, cydnedydd dy ran dy hun o honfi, a sych ymaith yn llwyr ypeth ac sy yn nhynnu i oddiwrthyt ti. O ddaionus Jesu, trugarha wrthy fi tra fo amser dy farn ofnadwy. O ddaionus JESU, os darfu i mi becadur truan, trwy dy gyfiawnder di haeddu tragywyddawl boenhau etto yr wyf yn appelio oddiwrth dy gyfiawnder di, ac yn rhoi cwbl o'm hyn ddiredd yn dy anhidraeth dyugaredd d oes gennyf ddim amman nas cymmer i drugaredd arnafi megis tad cariadus a dynnu arglwyd trugarog. O daionus Jesu, pa fudd sydd yu fy ngwaed i, gan fod yn rhaid i mi ddisgyn i lygredigaeth ? dianna bydd i'r rhai meirw dy fawoygu di na'r holl ra sydd yn hisgyn i uffern. O drugar Jesu trugarhy wrthaf. O garueiddia

fu, gwared fi, O fwyneiddiaf Jesu, dwg fi bechadur truan a rifedi y rhai a fydd cadwedig. O Jesu Jachawdwriaeth y rhai agredant ynot ti, trugarha wrth yf. O ddaionus Jesu maddeuant fy holl bechodau. O Jesu Fab y lan wyf Fair, cynhyfgaedda fi a'th ras, ac a doethineb, ac a chariad perflaith, ac a dianwadal, ac a gofi yngeiddrwyd, ie ac a dian wadal ddioddefgarwch yn fy holl wrth wyneb; fel y bo i mi dy garu di yn beuffaith, a chael ynot ti fy gogonheddu, a bodcwbl o'm difyrwch ynot ti, byth heb ddiwedd. *Amen.*

*Y madrodd Iob yn ei ddygn wrthwyneb, a'i golled am ei holl da.*

NOeth y daethym o groth fy mam, a noeth y dychwelaf: yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a ddygodd ymaith, bendipedig fyddo Enw'r Arglwydd *Amen.*

*Gweddi cyn gwr gando pregeth.*

O Drugarogcaf Dad, ac Arglwydd daionus, yr hun o'th fawr drugaredd a roddaist

oddaist dy fendigedig air i fod yn ganwyll ein traed ni ac yn oleuni i'n llwybrae : egor ein calonnau ni drwy weithrediad dy lan Yspryd, fel y gallom deall dy wirionedd di : Chaniadha i ni am y pethau y bom yn eu dell yn ol dy ewyllys di, allu o honom eu dilyn yn ein gweithredoedd a'n buchedau, er gogoniant i'th Enw di, a chadwedigaeth ein heneidiau ein hunain, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Gweddi wrth godi'r bore.*

O Arglwydd Jesu Grist, tydi yw gw[illegible] oleuni 'r byd, a'r haul sy bod amser y[n] tywynnu ac heb y machlyd un amser, a['][i] belydr di sydd yn goleuo pob peth ; lle w[...] cha attolwg i ti yn fy nghalon a'm hysp[ryd] i a gwasgara dywyll-nos pechod, a ch[...] duaniwl anwybodaeth allan o'm medd[wl] fell y gallwyf rodio yn weddus megis wrth liw dydd ac ymwrthod a gweithredoedd y tywillwch. Caniadha hyn Arglwydd, [er] mwyn dy anrhyddus gyfodiad. Amen.

Wrth fyned allan o'r ty.

O Arglwydd Dduw. Gwna i mi wybo[d] dy ffyrdd, a dysg i mi dy llwbrau. Cyfarwydda fy nghamau wrth dy sendi[g] gedig air. Arwain fi yn dy Gyfiawnder, [a] gwastadha dy ffordd a'm dlaen. Cynna[l] fy ngherddediad yn dy lwybrau, fel na lithro fy nrhaed. Bydded dy sanctaidd Angel gyda mi, rhag i'r cythraul gae[l] [g]wal, nac i'r anwir nesau i'm drygu. Ca[nia]tdha hyn er mwyn dy un Mab Jesu Grist [ein] Hargl[w]ydd; Amen.

*Wrth fyned i'th waith.*

[Y] Bore, O Arglwydd, yr a dyn, allan i'w waith, ac i'w orchwyl hyd yr [hwyr]. Dyro i mi ddeal a synhwyr yspry[dol] a nerth a gallu corphorol, i ddibennu [fy] ngwaith yn llwyddiannus ac fel yr [yd]wyf yn ei gychwn yn dy Enw di, cani[at]tha allu o honof ei orphen i'th ogoniant [di], drwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Wrth*